# Pryddestau

er cof am

# Griffith H. Humphrey,

## M. A.,

## Utica, N. Y.

Gyda Sylwadau ar ei Fywyd.

---

Hugh Hughes, Cyhoeddwr.

---

Argraphwyd yn Swyddfa "Y Drych"
1908

# Gair gan y Cyhoeddwr.

Dymunaf ddiolch i bawb sydd wedi cynorthwyo yn nygiad allan y gyfrol fechan hon, yn enwedig Cymdeithas y Cymreigyddion, Utica, N. Y., Cymdeithas y Derwyddon, Scranton, Pa., a'r Barnydd Henry M. Edwards, Scranton, Pa., yr hwn sydd wedi bod yn hynod o garedig. Yr wyf yn gobeithio y bydd y gyfrol yn dderbyniol gan lu cyfeillion ei gwrthrych, yr hwn wnaeth gymaint er lles llenyddiaeth Gymreig yn ystod ei oes. Yn ddiameuol bydd y sylwadau arweiniol yn gynorthwy i ddeall ac i werthfawrogi y pryddestau, pa rai oeddynt yn gydfuddugol yn Eisteddfod Utica am 1908, ac y darllenir yr oll gyda budd a dyddordeb.

Utica, N. Y. HUGH HUGHES.

# Rhagdraeth.

Gan y Barnydd Henry M. Edwards.

Derbynied y cyfaill Hugh Hughes fy niolchgarwch personol, vn nghyd a llongyfarchiad a diolchgarwch Cymry llengarol dyffrynoedd y Wyoming a'r Lackawanna, yn neillduol Cymdeithas y Derwyddon, Sir Lackawanna, ar ac am ei waith yn anturio cyhoeddi y pryddestau buddugol "Er Cof" am y diweddar G. H. Humphrey. Nid yw yn angenrheidiol i mi ar yr achlysur presenol ddatgan fy edmygedd a'm hoffder o'r cyfaill Humphrey. Yr wyf wedi gwneyd hyny yn gyhoeddus lawer gwaith. Yn unol ag awgrymiad Mr. Hughes, trefnydd a golygydd yr "In Memoriam," rhoddir yma y feirniadaeth ar y pryddestau. Gan fod y feirniadaeth yn cynwys rhai cyfeiriadau at Humphrey, priodol ydyw ei gwneyd yn rhan o'r rhagdraeth, a phriodol hefyd ydyw cyhoeddi y sylwadau beirniadol er tegwch a'r cystadleuwyr, buddugol ac anfuddugol. Dyma y feirniadaeth:

Gofynodd cyfaill i mi unwaith: Beth yw eich cynllun o feirniadu? Atebais: Yr wyf yn cymeryd y cyfansoddiadau i fyny, un ar ol y llall,

ac yn oriau yr hwyr, rhwng pedwar mur, mewn llonyddwch a dystawrwydd, yr wyf yn yfed yn helaeth o swynion ac ysbryd y gwahanol gynyrchion. Yr wyf yn ymdrechu gosod fy hun yn lle yr awdwr, gan edrych ar ei waith oddiar ei safbwynt ef. Wedi darllen un cyfansoddiad drwyddo a cheisio amgyffred pob llinell a brawddeg, yr wyf yn ysgrifenu nodion byrion ar y tablet sydd ger fy mron. Ambell waith mae un bryddest, neu draethawd, fel y dygwyddo, yn tra rhagori ar y lleill. Yna, gwaith rhwydd yw pwyso, penderfynu a dyfarnu. Dro arall, y mae tri neu bedwar o'r cyfansoddiadau yn ymddangos ar ol y darlleniad cyntaf yn lled gyfartal. Yna rhaid darllen drosodd a throsodd drachefn. Mae y nodion fel rheol gyffredin yn cymeryd i fewn gynllun yr ymdriniaeth, dillynder yr arddull, cywirdeb a nerth brawddegol a chystrawenol, naturioldeb y cymhariaethau ac arucheledd y farddoniaeth—os barddoniaeth sydd ar y bwrdd.

Derbyniais saith o bryddestau er cof am y diweddar gyfaill G. H. Humphrey. Cyn eu cymharu na phenderfynu eu safle yn y gystadleuaeth, gosodaf yma y nodion byrion a ysgrifenais ar ol y darlleniad cyntaf o bob un o'r pryddestau.

1. Jonathan.—Rhagorol, gwir ddarluniadol;

arddull ddymunol, cystrawen ddifai, barddoniaeth aruchel; rhaid cael pryddest gampus i guro hon. [Buddugol.]

2. Dros y Don.—Rhagorol eto; mwy o amrywiaeth mesurol, gormod feallai; saerniaeth llenyddol yn cynwys arddull, brawddegiaeth, cystraweniaeth, mydryddiaeth, corfan, &c., yn ddifai; tarawiadau barddonol; yn agos iawn at No. 1, o bosibl yn gyfartal. [Buddugol.]

3. Wyf Brudd.—Tra rhagorol eto; un mesur drwy y bryddest, mesur cyfaddas i ganu ynddo am Humphrey. Hynodir y gwaith hwn gan nerth unrhywiol a pharhaol o'r dechreu i'r diwedd. Ymddengys i mi ar ol y darlleniad cyntaf yn ogystal a Jonathan ac yn gryfach na phryddest Dros y Don. [Buddugol.]

4. Ei Edmygydd.—Tyner, dillyn, difai o'r dechreu i'r diwedd; pob sill a sillgoll, pob gair a brawddeg yn eu lle yn gywir; yn canu ar y mesur emynol 8 a 7—nid y cyfrwng goreu i ddarlunio Humphrey.

5. Bardwell.—Llawn o farddoniaeth dyner; awgryma Shelley i mi; y tarawiadau cyffredinol yn neillduol o farddonol, yn fwy felly na'r cyfeiriadau at wrthrych y bryddest ei hun, yn defnyddio y mesur arwrol yn effeithiol. [Buddugol].

6. Melus Adgof.—Pryddest gref; llinellau eg-

lur a nerthol; yn brawddegu yn effeithiol, yn darlunio Humphrey yn nghyflawnder ei ddoniau amryfal.

7. Edmygydd.—Darlun lled gywir o'r testyn; agwedd ryddieithol ar y bryddest; geiriau a brawddegau cyffredin—rhai o honynt yn sathredig, wedi anghofio'r sillgollau—yn mhell ar ol yn y gystadleuaeth hon.

Dyma derfyn ar y tablet. Y mae Edmygydd, Ei Edmygydd a Melus Adgof yn syrthio dros y bwrdd ac yn ymlithro allan o'r gystadleuaeth, er fod dwy o'r pryddestau yn wir dda. Yn aros y mae pedair o bryddestau gorchestol.

Nid wyf yn gwybod am yr un safon sicr ac anffaeledig drwy yr hon y gellir penderfynu tu hwnt i ddadl ac ameuaeth fod un o'r pryddestau hyn yn well na'r lleill, neu yn gymaint uwch ei theilyngdod fel ag i hawlio y wobr yn hytrach na'r lleill. Gwaith digon gwael i feirniad ydyw chwilio am fan feiau nas gellir eu canfod drwy ddrychau beirniadaeth resymol ond a ganfyddir drwy ddefnyddio chwydd-ddrych gor-feirniadaeth, megys gweled fel pe bae fod bob "t" wedi ei chroesi, a phob "i" wedi ei dotio. Am hyny yr wyf yn analluog i benderfynu fod un o'r pedair pryddest yn rhagori digon ar y lleill i symud ymaith y petrusder sydd yn fy meddwl. Hwyrach y gallai beirniad arall wneyd hyny.

Yr wyf am ddweyd mewn ffordd gyffredinol mai hon yw y gystadleuaeth oreu sydd wedi bod o dan fy sylw am flynyddoedd. Diau fod y testyn i raddau helaeth yn cyfrif am hyn. Mae y beirdd ar eu goreu. Bu Jonathan, Wyf Brudd a Bardwell yn ffodus yn eu dewisiad o fesurau. Gwir nad arwrgerdd yw pryddest-goffa, eto i gyd, i wr mawr, cadarn, cawraidd fel Humphrey, y mae y mesurau arwrol yn help i'r cyfansoddwr. Mae y mesurau a ddefnyddia Dros y Don yn fwy addas i delyneg, ond prydferth a thyner neillduol ydyw pryddest Dros y Don er hyny.

Dyna'r oll o'r feirniadaeth cyn cychwyn i Utica.

Ar y ffordd, ac wedi cyraedd Utica, penderfynwyd gan y cyfeillion o Scranton i roddi gwobr gyfartal i wobr yr Eisteddfod. Felly rhanwyd gwobr yr Eisteddfod, No. 1, rhwng Jonathan ac Wyf Brudd, a gwobr yr Eisteddfod, No. 2, rhwng Bardwell a Dros y Don.

# Bywyd y Gwrthrych.

Gan Hugh Hughes, Utica, N. Y.

Yn marwolaeth G. H. Humphrey collodd Cymry America wr o gadernid a dylanwad. Anhawdd fydd cael un i lenwi ei le yn mhob cylch. Mewn gallu meddyliol nid oedd yn ailraddol i'r un gwr cyhoeddus a fedd ein cenedl yn bresenol. Llefarai fel un ag awdurdod, a chyda hyawdledd ac eglurder bob amser. Nodweddid ef hefyd gan ddifrifoldeb, yr hyn a brofai argyhoeddiad dwfn a gwroldeb mawr. Y mae ei ymadawiad wedi gadael gwagle yn y cylch yn mha un yr oedd mor gyhoeddus a chymeradwy.

Yr oedd wedi bod yn nychu am fisoedd. Gwyddai ei gyfeillion er's amser fod dydd ei ymddatodiad yn agoshau. Yr oedd y prudd-der a arddangosai ar ei wynebpryd yn dangos ei fod yntau yn gwybod hefyd. Ond daliai ei afael yn y bywyd hwn yn gyndyn, ac ni roddodd i fyny yr ysbryd hyd nes bu raid. Fel yr oedd yn nesu at y glyn yr oedd harddwch ei gymeriad yn dyfod yn ddysgleiriach. Teimlai fod ei draed ar y graig ac nas gallai dim ei ddymchwelyd. Cymerodd ei farwolaeth le yn ei gartref yn Utica,

N. Y., Tachwedd 16, 1906, ac yr oedd ei fynediad ymaith yn brawf o wirionedd y ffydd a broffesai ac a gofleidiai ar hyd ei oes. Er mai yn y byd Cymreig yr oedd ef wedi dyfod yn fawr, eto nid oedd wedi bod yn esgeulus o'i ddyledswyddau fel dinesydd, ac yr oedd yn llenwi lle amlwg yn y ddinas lle yr oedd wedi trigo am 22 o flynyddoedd. Cyhoeddodd papyrau Utica ysgrifau meithion yn dangos ei werth a'i gyhoeddusrwydd, a dangosid fod un ag oedd wedi enill parch ac edmygedd ei gyd-ddynion wedi ei gymeryd ymaith. Cafodd angladd lluosog ac anrhydeddus, eithr syml, yn unol a'i ddymuniad ef ei hun. Pregethwyd oddiar destyn o'i ddewisiad ef a chanai plant yr Ysgol Sabbothol ddarnau a ddewisodd ef erbyn yr amgylchiad. Aeth i lawr trwy'r glyn yn hollol feddianol ar ei bwyll a'i synwyrau, ac mae ei dystiolaeth olaf, "Nid oes arnaf ofn," yn gadarnach o herwydd hyny. Fel pob marwol cafodd lawer o helbulon, a dyoddefodd flinder, ond bu ei farw yn fendigedig.

Nid yw cofnodion ei fywyd yn faith. Yn gyflawn, Griffith Henry Humphrey ydoedd ei enw. Ganwyd ef yn Sir Gaernarfon, Gogledd Cymru, Awst 26, 1844. Pan yn llai na blwydd oed daeth gyda'i deulu i'r wlad hon. Prynodd ei dad fferm yn Ixonia, Wis., ar yr hon y bu ef yn byw hyd

nes tua 20 oed. Cafodd fantais ysgolion dyddiol y lle a daeth yn athraw cyn y diwedd. Dangosai pan yn fachgen fod rhywbeth ynddo mwy na'r cyffredin, ac nad oedd arno eisieu ond manteision i ddod yn wr blaenllaw mewn cymdeithas. Nid yw'r ffaith ei fod yn barddoni yn dangos dim yn neillduol, ond y mae y ffaith ei fod yn "barddoni yn dda," yn profi rhywbeth. Nid yw y ffaith ei fod yn ddarllenwr mawr, ychwaith, ond yma ac acw mewn oes yn yr hon y mae pawb yn darllen, ond y mae y ffaith ei fod yn darllen y llyfrau goreu a mwyaf dyrys, ac yn eu meistroli, yn llawn o argoeliad. Yn mhen amser aeth i goleg Washington a Jefferson, yn Washington, Pa., lle y graddiodd yn 1869. Yna aeth i'r ysgol dduwinyddol yn Allegheny, Pa., o'r hon y graddiodd yn 1873. Ordeiniwyd ef i bregethu gan y Presbyteriaid yn Baltimore yn 1871, ac yn union daeth yn weinidog ar eglwys y South Side yn Pittsburg, Pa., lle yr arosodd hyd 1876. Y flwyddyn hono cafodd alwad i eglwys y Methodistiaid Calfinaidd yn nhref New York, i'r hon y bu yn gweinidogaethu hyd 1884. Y pryd hwnw ymadawodd a gwaith y weinidogaeth ac ymgymerodd ag efrydiaeth y gyfraith, yr hon oedd wedi fod yn astudio ryw gymaint yn Wisconsin. Cymerodd gwrs yn adran gyf-

reithiol Coleg New York, a graddiodd yn 1884. Y flwyddyn nesaf pasiodd arholiad yn Syracuse, N. Y., a daeth yn gyflawn gyfreithwr yn ol deddfau y Dalaeth. Yna, yr un flwyddyn, ymsefydlodd yn Utica, lle y bu yn ysgrifenu erthyglau golygyddol y "Drych" hyd 1893, gan ddangos y gallu a'r dysg oedd yn nodweddiadol o hono. Ar ol hyny ymsefydlodd fel cyfreithiwr yn y dref, a pharhaodd yn yr alwedigaeth hyd y diwedd, gan fwynhau mesur da o lwyddiant.

Yr oedd Mr. Humphrey yn ysgolor gwych. Cafodd ei ddwyn i fyny mewn ardal lle yr oedd llawer o Ellmynwyr, a dysgodd eu hiaith, fel y daeth trwy ychydig efrydiaeth yn mhellach, yn alluog nid yn unig i'w siarad ond ei hysgrifenu a'i darllen yn rhwydd. Nid oes eisieu dweyd fod ei Gymraeg yn goeth a chlasurol, ond nid allan o le ydyw sylwi fod ei feistrolaeth ar y Saesneg yn llawn mor gyflawn. Ysgrifenodd fyrdd o ysgrifau ar wahanol bynciau yn ystod ei oes. Pan yn Pittsburg cyhoeddodd nifer o erthyglau ar faterion politicaidd a chrefyddol. Pan yn New York ysgrifenodd gyfres o ysgrifau ar "Gristionogaeth ac Anffyddiaeth," pa rai a enillodd anrhydedd mawr iddo fel dadleuydd galluog. Cyhoeddodd mewn canlyniad i'r ysgrifau hyn

gyfrol ar "Sefyllfa Ddyfodol y Pechadur." Pwnc arall yr ysgrifenodd lawer arno ydoedd, "Yr hyn y mae Cristionogaeth wedi ei wneyd er rhyddid politicaidd ac addysgiadol." Bu ei gyfraniadau llenyddol i'w oes yn foddion o symbyliad a goleuni mawr i'w genedl ac nis gellir mesur gwerth ei lafur yn y cyfeiriad hwn. Parai ei ysgrifau i ddynion feddwl, ac y mae'r hwn sydd yn gwneyd hyn yn cyflawni gwaith anfesurol ei ddylanwad. Diffyg ystyriaeth ydyw un o wendidau y byd, ac y mae'r dyn hwnw sydd yn rhoddi ysgogiad i feddyliau y bobl yn cychwyn ymchwiliad, canlyniad yr hwn fydd mwy o oleuni a gwelliant cymdeithasol. Yn y cyfeiriad yma —fel symbylydd—y gwnaeth G. H. Humphrey ei gyfraniad mwyaf i'w oes. Nid yw hyn yn gyfystyr a dweyd nad oedd yn addysgiadol, eithr rhaid bod yn wir addysgiadol cyn y gellir symbylu. Y mae llawer a allant ysgrifenu yn ddigon da, ond y mae yn gofyn gwr o adnoddau mawrion i ysgrifenu yr hyn a baro i ddynion ddadleu a phetruso. Un felly ydoedd Mr. Humphrey.

Nid oedd ei ddyddordeb a'i lafur yn gyfyngedig i bethau Cymreig, canys yr oedd ei ymroddiadau yn amrywiaethol, ac felly yr oedd yn wr cyflawn. Cymerai ddyddordeb mewn gwleidydd-

iaeth ac amgylchiadau y wlad a'r byd yn gyffredinol. Gwerinwr ydoedd yn boliticaidd, eithr un annibynol. Ni ddylynai foss, ac yr oedd yn erbyn pob anonestrwydd ac anfoesoldeb politicaidd. Yr oedd yn aelod gwreiddiol o Gymdeithas Werinol Swydd Oneida, N. Y., ac efe ysgrifenodd gyfansoddiad y gymdeithas. Gelwid arno yn aml i wneyd anerchiadau politicaidd, a bu yn traddodi anerchiadau dan nawdd pwyllgor cenedlaethol y Gwerinwyr yn Wisconsin a thalaethau eraill, gan siarad, weithiau yn Gymraeg ac weithiau yn Saesneg neu Germanaeg, fel y byddai galwad. Yn nhref Utica cymerai ran yn mhrif symudiadau y ddinas, ac yr oedd yn un o ddynion cyhoeddus y lle. Yr oedd yn aelod o gymdeithas y Seiri Rhyddion, ac yn dal swydd yn Nghyfrinfa Faxton. Perthynai i'r Cymreigyddion ac i Gymdeithas Elusengar Utica, ac yn y sefydliadau hyn oll yr oedd, fel y gellid dysgwyl, yn fwy nag aelod cyffredin. Yn eglwys Bresbyteraidd Olivet, lle yr oedd yn aelod, yr oedd yn ddiacon ac ymddiriedolwr, ac hefyd yn arolygydd yr Ysgol Sabbothol Efe oedd llywydd cyntaf Undeb Ysgolion Sabbothol y dref, a bu ei waith yn y cysylltiad hwn yn effeithiol i wneyd llawer o ddaioni Yr oedd ei ymrwymiadau, fel y gwelir, yn lluosog, ac yr oedd yn wr

defnyddiol a gwerthfawr yn y cylch, yn ogyfuwch a'r oll, ac yn fwy dylanwadol na'r oll, oedd ei fuchedd ddysglaer, yr hyn a roddai awdurdod i'w weithredoedd ac anrhydedd i'w gymeriad. Yn 1881 cafodd y pleser o dalu ymweliad a'r Hen Wlad, lle mwynhaodd tua thri mis, gan gael ei barchu yn fawr o herwydd ei alluoedd meddyliol a'i addfwynder fel cydymaith a chyfaill.

Yn ein mysg ni—Cymry y wlad hon—nid oedd neb yn fwy adnabyddus. Yn yr ystyr yma yr oedd yn gymeriad cenedlaethol. Pan yn y weinidogaeth ystyrid ef fel un o bregethwyr galluocaf a mwyaf dwfn y Methodistiaid Calfinaidd, ac yr oedd wedi cael y fraint o weinyddu ar ddwy o eglwysi mwyaf llewyrchus yr enwad yn y wlad. Trwy ei gysylltiad golygyddol a'r "Drych," daeth yn adnabyddus i bob Cymro yn America, a dangosai ei waith ar y papyr hwn yr un gallu uwchraddol ag a nodweddai ei waith yn y pwlpud. Yn myd yr eisteddfod, yr oedd yn un o'r rhai blaenaf. Yr oedd wedi gweithredu fel beirniad eisteddfodol yn mhob rhan o'r wlad, ac yr oedd ei farn ar faterion llenyddol yn addfed a choeth, ac yn dangos gwerthfawrogiad bob amser o wir werth a thalent. Yr oedd yn wr o gydbwysedd meddyliol hynod, ac yr oedd ei ddarpariaeth

addysgiadol wedi bod yn gyflawn a sylweddol. Nid oedd un adran o wybodaeth a'r hon nad oedd yn meddu rhyw gymaint o adnabyddiaeth. Yr oedd wedi astudio y gyfraith yn ddwfn, a meddai ddealltwriaeth dda o'i hegwyddorion.

Ond mewn duwinyddiaeth yr hynodai ac y dangosai y gallu mwyaf gwreiddiol, ac yr oedd ei gydymdeimlad fwyaf. Trwy y gyfres o erthyglau yn erbyn anffyddiaeth yr oes, yr hon a gyfeiriwyd ati, y daeth i sylw a chyhoeddusrwydd gyntaf. Fel y cofir, yr oedd ton o anffyddiaeth fel pe yn ysgubo dros y wlad y pryd hyny, a chafodd Mr. Humphrey y fraint o fod o ddefnyddioldeb mawr trwy ei ysgrifau i wanhau ei dylanwad ar feddyliau y werin. Derbyniai y Beibl fel anffaeledig Air Duw, ac fel sylfaen ffydd ac ymarweddiad, a bu ei argyhoeddiad pendant yn y cyfeiriad hwn, mewn oes o ameuaeth, yn foddion iddo gymeryd rhan mewn llawer dadleuaeth frwd ar faterion crefyddol a duwinyddol. Teimlai mai ei ddyledswydd ydoedd amddiffyn a chadw y ffydd yn ei phurdeb a'i dysgleirdeb gwreiddiol, ac yn y cyfeiriad yma cyflawnodd waith anmhrisiadwy i Gymry America. Yn ystod y flwyddyn ddiweddaf o'i fywyd, bron pan oedd chwys angeu ar ei wyneb, ysgrifenodd nifer o erthyglau yn rhybuddio y werin

yn erbyn gau-broffwydi yr oes a'r mudiadau duwinyddol a dueddant i dori i lawr gadernid y ffydd. Fel pregethwr yr oedd bob amser yn ddwfn ac yn gadael argraff ar feddyliau ei wrandawyr. Yr oedd hefyd yn eglur a phwyllog ei lefariad, ac yn glir ei feddylddrychau, gan arddangos argyhoeddiad trwyadl a difrifoldeb mawr. Yr oedd ei ysgrifau hefyd yn arddangos yr un nodweddion—grymusder ac eglurder—gyda meistrolaeth hollol o'r mater. Pethau difrifol a driniai arnvnt yn fwyaf cyffredin yn ei lafur llenyddol, ond y mae wedi gadael nifer o ddarnau tlws mewn barddoniaeth a rhyddiaeth, pa rai a ddangosant ei alluoedd amrywiaethol. Un o ddylynwyr John Calvin a Jonathan Edwards ydoedd, ac fel y tadau hyn, meddyliwr ydoedd yn fwyaf neillduol. Medda ei philosophi o fywyd, neu ei dybiaeth, nod o anffaeledigrwydd a phendantrwydd, pa un ag oedd yn hollol wrthwynebol i'r oes hon sydd mor rhydd mewn pethau duwinyddol. Ei fod wedi bod yn dwr o gadernid i wrthsefyll y gwrthwynebiad sydd wedi bod yn erbyn gwirionedd y Beibl a chrefydd, nid oes lle i ameuaeth. Ar y maes, vr oedd yn bersonoliaeth gadarn, annibynol a di-ildio. Dangosai yr erthyglau a gyhoeddodd yn ystod ei waeledd ei fod yn ymwybodol fod ei oes ar derfynu,

ac yr oedd yn eglur ei fod yn feddianol ar ffydd barhaol a hynod o brydferth. Yr oedd yr anfarwoldeb oedd wedi bregethu mor barhaus ac anniffygiol, ac yn yr hon y credai mor lwyr, fel craig y noddfa iddo yn ei drallod a'i wendid, ac ni phetrusai mewn meddwl nac ysbryd am y dyfodol. Credai yn ddiffuant y byddai iddo weled Iesu. Er ei fod wedi ei anrhydeddu yn uchel gan ei gyd-ddynion, eto ni ddaeth yn fawreddog ei deimlad, eithr hyd y diwedd yr oedd yn wr addfwyn a dichlynaidd, hawdd ei gyfarch a llawn o gydymdeimlad. Curai ei galon yn gynes tuag at bawb. Cymellwyd ef i ail ymgymeryd a'r weinidogaeth, ond nid allai weled ei ffordd yn glir, er mai gyda phethau crefydd yr oedd ei fryd. Yr oedd ei ddarllen a'i astudiaeth gan mwyaf wedi bod ar hyd llinellau gwirioneddau mawrion a dyrys bywyd, pethau elfenol bodolaeth, a'u hegluro, er lles a hapusrwydd dynoliaeth ydoedd ei hoff waith, a'r gwaith at yr hwn yr ydoedd fwyaf cymwys trwy ddarpariaeth addysgiadol a gallu naturiol.

Yr oedd yn wr y gellid ei wahaniaethu yn y dorf, ac ar hyd ei yrfa yr oedd annibyniaeth ei argyhoeddiad a'i leferydd y fath fel yr enillodd safle ac awdurdod yn mhlith ei gyfoesolion. Cafodd ei alw adref yn anterth ac yn nghanol

ei ddefnyddioldeb fel milwr da yn mhob achos daionus, eithr gadawodd farc eglur ar ei oes a bydd coffa am dano yn hir.

Yn 1883 bu i Mr Humphrey briodi a Miss Winifred M. Richards, Fair Haven, Vt., yr hon sydd yn aros ar ei ol, gyda dau fachgen, Oliver o Chicago, a George o Utica. Hefyd, gedy frawd, John E. Humphrey, yr hwn a driga yn yr hen gartref yn Ixonia, Wis.

# Ei Nodweddion.

Gan y Parch. H. O. Rowlands, D. D.

O ran ei berson, dyn tal oedd G. H. Humphrey, yn agos i chwe' troedfoedd, pryd tywyll, llygaid treiddgar dan aeliau duon, hirion; ei wyneb yn farfog; dywedai ei fod yn debyg i "hen Iuddew Rwsiaidd." Pan y gwenai yr oedd ei lygaid a llinellau ei wyneb yn swynol a charuaidd. Yr oedd ei lais yn gryf ac yn codi oddiar y cordiau lleisiol isaf. Siaradai yn bwyllus ac araf a chydag acen bwysleisiol ar ryw air neillduol yn y frawddeg; amneidiai a'i fys i chwanegu yr acen. Yn ei gymdeithas yr oedd yn hynod o ddyddorol; fflachiai dyfarniadau barddonol, engreifftiau hanesyddol, nodiadau am bersonau, sylwadau ar bynciau y dydd, yn neillduol y crefyddol, oeddynt yn finiog a pherthynasol. Yr oedd yn bleser i wrando arno a'r buddioldeb yn ddiderfyn. Yr oedd ei frawddegau yn gryfion, rhyw fath o Doric strength ynddynt, ei eiriau yn gyraeddol, y gystrawen yn wreiddiol a chyfareddol, a'r hyn a gyfleai bob amser yn eglur a diamwys. Ni wyddai beth oedd cyfaddodi pan yn dweyd ei farn, nid oedd byth ar y fence;

gwyddai ei feddwl a'i argyhoeddiadau, ac os dywedai rywbeth rhoddai lais i'w feddyliau gonest, hyf, heb ofn na ffafr.

Cofiwyf ryw dro fod cwmni mewn parlwr yn unfrydol iawn i orfoli rhyw areithyddes Gymreig oedd y pryd hwnw yn rhodiana dros y wlad —ei bod yn "dalentog," yn "gyfareddol," &c. Gofynwyd i Gruffydd (wrth yr enw hwn y cyfarchwn ef bob amser, Gruffydd a Huw oedd ein henwau i'n gilydd) ei farn ef am y dduwies. Atebodd, "Yr oeddwn yn mawr edmygu y brooch a ddysgleiriai ar ei brest." Ar unwaith tawelodd y moli ac yr oedd gwyneb Gruffydd yn gyfrol hawdd i'w darllen o'i fyntumiad o'r broffwydes a orfolid. Nid oedd ganddo y gronyn lleiaf o amynedd gyda'r un sham na hoced mewn un man. "Bardd Corff" y galwai rigymwr llinellau "er cof," &c. "Shamiaid" y galwai y rhai oeddynt yn goeg-ddysgedig yn beirniadu duwinyddiaeth. Ychydig allent weled trwy wir werth dyn yn nghynt nag ef. Clorianai gymeriad yn ddifeth; ond ni chyhoeddai ei farn yn ddiachos a diangenrhaid. Feallai fod ei eglurder diamwys i fynegu ei farn am bobl a phethau wedi peri profedigaeth iddo yn awr ac yn y man.

Ni ryfeddai cydnabyddion G. H. Humphrey at ei dalent a'i athrylith; yr oedd gwythien o'r gallu-

oedd hyn yn rhedeg trwy wahanol gangenau y teulu. Yr oedd yr anfarwol Dewi Wyn yn perthyn i'r tylwyth. Adwaenwn yn bersonol amryw deuluoedd oeddynt yn berthynasau pell neu agos iddo—rhai o honynt yn werinog a gwladaidd, heb ond ychydig o addysg llyfr; ac eto yr oedd ynddynt oll ryw nodedigrwydd deallol oedd yn eu neillduo oddiwrth y cyffredin. Ynddo ef cafodd y dalent ei chaboli a'i gloewi, a'i gyru allan at y cyfnewidwyr fel y lluosogwyd hi ar fwy na'r ganfed. Yn rhywle yn ol—feallai fwy na chan mlynedd, daeth i'r tylwyth ddyn neu ddynes yn meddu rhyw alluoedd meddyliol nodedig, ac mae deddf disgyniaeth wedi peri i eneidiaeth y cyndad hwnw i lefeinio canoedd o'r disgynyddion. Daeth Gruffudd Humphrey yn feddianydd helaeth o'r cyfoeth ymenyddol hwn, fel yr oedd yn cychwyn bywyd gyda chyfran helaeth o gyfalaf. Gallai y cyfaill craffus Iago Ddu ddweyd yn fanylach ar hyn nag y gallaf fi o herwydd eu cyfeillgarwch boreuol cynes ac ymddiriedol.

Cyflwynodd Mr. Humphrey ei hun i'r Arglwydd mewn bywyd crefyddol tua'r flwyddyn 1859, dan ddylanwadau cyfarfodydd diwygiadol a gynelid gan Humphrey Jones, y diwygiwr enwog, ac ymunodd ag eglwys y Trefnyddion Calfinaidd yn ardal Ixonia. Trwy ei fywyd yr

oedd ei droedigaeth wedi ei ddwyn oddiamgylch gan y dylanwadau priodol; ofnai mai cynyrfiad nwydol allai fod, neu ddylanwad ei gyfoedion arno. Arferwn ei adgofio nad oedd yn bwysig sut y daeth at ei Geidwad; y peth mawr oedd y ffaith ei fod wedi dyfod, ei fod wedi bod yn ddall ond yn awr yn gweled. Pan aeth i'r coleg yr oedd yn ansicr parthed myned i bregethu; ond ymroddodd i waith y coleg a gadawodd i'r canlyniadau i gael eu hamlygu gan ragluniaeth. Yr oedd yn naturiol wylaidd ac ofnus, a chafodd gryn lafur i orchfygu y lluddiadau hyn. Yn ystod ei holl fywyd, pan oedd y tymestloedd gerwinaf yn curo arno, ac yntau mewn penbleth i ddeall paham yr unigolid ef gymaint i ddanedd y storm, ni chollodd am fynyd ei ffydd yn Nuw a'i ddaioni.

Ar ol dyfod i Utica i fyw a rhoddi ei hun i efrydu y gyfraith ni ymgiliodd oddiwrth fywyd crefyddol cyhoeddus. Ymaelododd gyda'r Presbyteriaid, lle yr oedd yn aelod gweithgar a dylanwadol. Ni ymgiliodd ychwaith oddiwrth ei genedl, ond yr oedd bob amser at wasanaeth ei llenyddiaeth a'i chrefydd. Tra y gwrthodai bregethu yn ffurfiol gwnai hyny yn sylweddol; cymerai bwnc yn hytrach na thestyn i'w drafod, ond pregeth rymus ac ymarferol fyddai'r anerch-

iad. Dywedodd fy nghyfaill, Dr. Roberts, Wilkes-Barre, wrthyf iddo dreulio wythnos yn ei eglwys ef i siarad bob nos yn un o'r ddwy iaith, ac fod yr anerchiadau yn efengylaidd, ysbrydol a chyraeddol yn mhell tu hwnt i'r cyffredin. Yr oedd yn geidwadol yn ei olygiadau duwinyddol. Ychydig o gydymdeimlad oedd ganddo a'r "higher critics" proffesyddol. Honai eu bod yn dal eu damcaniaethau fel ffeithiau, eu bod yn negyddol yn hytrach na chadarnhaol, yn ddistrywiol yn hytrach na chystrawenol ac adeiladol. Honai mai dynwaredu critics Germani yr oedd y rhan luosocaf o honynt; ac fod yr oll o honynt yn annheg, yn orfeirniadol ac yn aml yn hocedus yn eu trafodaeth o'r Beibl.

Ysgrifenodd lawer i'r wasg Gymreig fel gohebydd ac fel awdwr erthyglau golygyddol y "Drych." Yr oedd bob amser yn trafod pynciau byw ac ymarferol ac mewn dullwedd argraffiadol, egniol a goleu. Clirder meddwl ac ymadrodd oedd un o'i nodweddion mwyaf arnodol. Yn mlynyddoedd cyntaf ei fywyd cyhoeddus, fel pob dyn ieuanc, hoffai ruthriadau dadleuol, gornestu, a chyfnewid dyrnodiau celyd. Yr oedd clirder, yni, nerth, dwysder ac egnion pwerus yn fwy amlwg yn ngwyddor ei ymgyrchoedd nag oedd yr arf llathr a miniog yn cyraedd dirgelion

bywyd ei wrthwynebydd. Yr oedd yn fwy o bastynwr nag o drywanwr a'r dur oer; egni yn hytrach na min yr ergyd oedd uwchaf yn ei feddwl. I'm tyb i, y llythyrau galluocaf a ddarllenais o'i eiddo oedd y rhai a ysgrifenodd yn erbyn duwinyddiaeth R. L. Herbert. Gwnaethant argraff annileadwy ar y meddwl Cymreig yn y Talaethau. Ni foddhawyd fi gymaint yn ei ddadl fawr a'r Anffyddiwr Bennett. Mae yn ameus genyf a oedd ef ei hunan yn ymfalchio yn mlynyddoedd diweddaf ei fywyd yn yr ornest hono. A'i gymeryd oll yn oll, feallai mai "S. R." oedd yr unig ysgrifenydd Cymreig fu yn America oedd yn fwy na'i gyfartal. Yr oedd R. L. Herbert yn fwy cyfareddol fel broddegwr ac ensyniwr llyfn a llathr; ond yr oedd yn wan yn nertholwch cystraweniaeth, a phwrpasau uchel G. H. H.

Gadawaf i'r beirdd ei dafoli yn swyddogol: ond fel lleygwr goddefer i mi ysgrifenu fod ynddo yn helaeth elfenau hanfodol i fardd. Crebwyll a darfelydd creadigol, enaid mewn cymundeb cyfriniol ag anian a natur nwydau ysbrydol oeddynt yn ferwol o ddwys: amgyffredion uchel a llydain: lygad i weled a mesur y mawreddog a'r prydferth; yr oedd ei farn yn fwy sicr na'i chwaeth mewn barddoniaeth yn ogystal a ffurfiau eraill o lenyddiaeth. Fel cyfansoddwr yn y

mesurau caethion yr oedd i mi yn mhell o flaen yr un o'i gyfoedion, canys yn ychwanegol at y nodweddion uchod yr oedd ei gynganeddion yn ystwyth, ei eiriau yn ddealledig, a'r synwyrebau (sentiments) yn epigrams a ymsaethant fel bolltau o'i gyfansoddiadau. R. ab Gwilym Ddu yw yr unig englynwr sydd i'm chwaeth gyffredin i yn rhagori arno. Enillodd lawer o wobrau eisteddfodol, a bu o fewn trwch blewyn o enill cadair Eisteddfod Genedlaethol Cymru mewn un gystadleuaeth. Yn ei ymddyddan a mi dywedai ei fod wedi rhoddi gormod o'i amser at farddoniaeth; ac y dylasai fod gwedi gwneyd barddoni yn ddygwyddiadol—cyfansoddi yn unig pan y deuai yr "ysfa" arno—a pheidio rhoddi ei hun yn gymaint i'r gwaith hwnw.

Yn ystod yr ychydig flynyddoedd y bu G. H. Humphrey yn y weinidogaeth Gymreig enillodd safle uchel fel pregethwr cryf, dylanwadol, iach a phoblogaidd. Yr oedd yn hollol o'r tu allan i'r hen ddull a'r ffordd Gymreig. Ni allai ddyoddef dynwarediaeth; yr oedd hyny iddo ef yn ffugiant a gwendid anfaddeuol. Peth arall, yr oedd ef ei hunan yn wreiddiol ac annibynol yn ei holl feddyliaeth. Yr oedd yn hawddach fil iddo ef greu na benthyg. Felly safai ar "ei ben ei hun" fel cyfansoddwr a thraddodwr. Dwy

waith y clywais ef; y tro cyntaf yr oedd yn hanesyddol, esboniadol, ymarferol, difyrus a hynod o adeiladol. Rhoddai ffurf i feddyliau newyddion oedd yn dangos astudiaeth a gwybodaeth eang, a thraddodai y genadwri yn gwbl rydd o ffurfiau corfforol a nodau lleisiol oeddynt yn cael eu cyfrif mor angenrheidiol i'r pregethwr Cymreig. Yr ail dro y clywais ef oedd mewn "cyfarfod chwarterol;" cydbregethai ag ef yn yr oedfa yr enwog Barch. ———. Yr oedd hon yn un o'r pregethau ymarferol mwyaf pwerus a glywais erioed. Yr oedd y pregethwr fel rhyw gawr wedi ei ollwng yn rhydd ar rengau y gelynion; rhuthrai hwynt; taflai hwynt dan draed ei farch; dychrynai hwynt i ffoi; a phan oedd wedi enill y fuddugoliaeth arnynt, yna llefodd fod gan ei Feistr faddeuant i'r oll o honynt, ac anogai hwynt yn daer a thyner i wneyd eu heddwch a Duw. Rhyw fath o dymestl ysgubellog oedd y bregeth; ond llawer o wlaw graslawn yn myned gyda hi. Gresyn oedd i'r pregethwr dylynol geisio pregethu yn yr oedfa hono, a phrofodd ei ymgais yn ffaeledd anfaddeuadwy. Yr oedd G. H. Humphrey wedi dihysbyddu galluoedd derbyniol y gynulleidfa i wrando yn mhellach hyd yn nod pe buasai angel yn llefaru. Yr oedd gwefr pwerus ei bersonoliaeth yn cydio, yn

llosgi ac yn cyniwair trwy holl gyneddfau eneidiol y gwrandawyr.

Dydd Iau, Awst 23, 1906, ymwelais a'm cyfaill gyda'm chwaer, Mrs. Griffith, Chicago, hen ffrynd i'w chwaer yn gystal ag iddo ei hun. Ar ol rhyw haner awr o gymdeithasu amlygodd i'w briod ei ddymuniad i ni gael ein gadael yn unig. Yr oedd wedi cael noswaith ddigwsg o herwydd poenau ei selni, am hyny yr oedd ei deimladau yn orddwys fel yr oedd yn anhawdd iddo ymatal oddiwrth ddagrau, yn enwedig wrth drafod y mater oedd ar ei feddwl ag y dymunai ymddyddan a mi yn ei gylch. Ysgrifenais sylwedd ei ymadroddion yn mhen ychydig oriau wedi i mi ei adael, ac yr wyf yn alluog i roddi eu cynwys agos yn ei eiriau ei hun. Yr wyf yn sicr y byddant yn ddyddorol i'w hen gyfeillion. Siaradai weithiau yn Gymraeg ac weithiau yn Saesneg: "Huw," ebe fe, "yr wyf wedi bod yn gryn ddarllenwr o lyfrau ar bynciau crefyddol, yn enwedig rhai o duedd ddadleuol. Cymerwn safle gref ar ryw ochr neu gilydd; ond yn awr, mae'r oll wedi dyfod yn syml iawn i mi. Dyna bwnc yr Iawn. O, fel y meddyliais, y siaredais ac y dadleuais dros ryw olygiad neu theory o hono; ond heddyw, dyma yr oll a wn am dano: Gwnaeth Iesu Grist rywbeth erddof a throsof sydd wedi fy

nwyn i undeb a'm Tad nefol; dyna'r oll! Iesu Grist wedi'm huno a Duw trwy ei haeddiant ef ei hun—dyna yw'r Iawn i mi."

"Huw, yr oeddwn i wedi bod yn iselfryd a thywyll fy meddwl am ddiwrnodiau yn ddiweddar; ffaeleddau, anmherffeithderau a meflau'm hoes yn codi o'm blaen nes ei gwneyd yn gymylog arnaf; ond y dydd o'r blaen pan 'roeddwn yn moedro ar y pethau hyn—p'un ai yn nghwsg neu effro nis gwn, gwelais ddwylaw Iesu Grist yn estynedig ataf o'r tywyllwch fel yn fy ngwahodd i afael ynddynt. Codais fy nwylaw fy hun a médrais afael yn ei ddwylaw Ef, a byth er hyny mae hi wedi bod yn hapus iawn ar fy ysbryd, dim pryder, dim gofal, ond gafael yn nwylaw yr Iesu."

Aeth dros y profiad, neu'r weledigaeth yna ddwy waith neu dair; dellid ei lygaid gan ddagrau, ymgynyrfai ei nwydau eneidiol, torai ei lais froddegau briwiedig, a'r oll yn arwyddocau hedd a llawenydd ac ymorphwysiad cwbl ar "Iawn fy Iesu," a'r hyn a wnaeth Ef erddo a throsto. Parai i mi gofio profiad gwely angeu dyn enwog arall, "It all comes to this; a great sinner in the hand of a greater Saviour." Yn yr ymweliad hwn, heblaw llawer o bethau a ddywedodd mewn cysylltiad a phrofiad crefyddol adroddai yr eng-

lynion canlynol, y rhai a gopiais fel yr adroddai hwynt.

**"Y Tadau pa le Maent Hwy?"**

Y Tadau, pa le maent, d'wedwch;—feini
Y fynwent atebwch!
I lawr yn y dystaw lwch—
Adre' uchod—edrychwch!

---

**"A Chariad Tragwyddol y'th Gerais."**

Cyn i ddig rincian ei ddaint—yn gynar
Cyn geni digofaint,
Daliai serch ddyfodol saint
Yn anwyl dan ei enaint.

Dyna fraslun anmherffaith a ysgrifenwyd yn frysiog o fywyd fy hen gyfaill, yr anwyl, y cywir, y cyfeillgar a'r talentog G. H. Humphrey. Crwydrodd cymylau bygythiol yn ffurfafen ei oes; diameu iddynt ddiffoddi llawer pelydr dysglaer fuasai wedi bendithio byd; ond er hyn oll mor glaer, dysglaer a thesog oedd ei dalent fawr fel y llewyrchodd trwy y niwl a'r cwmwl, a dyddanwyd lluaws gan y tywyniadau cyfoethog. Diolch i Dduw am ei fywyd defnyddiol. Mae'r ddaear yn well o'i wasanaeth a'r nefoedd yn anwylach o'i fynediad iddi. Ei haul a fachludodd

tra yr oedd hi yn ddydd, ond erys ei oleuni yn hir.

Er gwyro i ar y gweryd—a hunaw
O hono heb glefyd;
Dydd Barn a diwedd Byd,
Da cofiwn Duw a'i cyfyd.

# Y Bardd ar ei Wely.

Gan Index.

("Codais fy nwylaw a medrais afael yn ei ddwylaw Ef, a byth er hyny, mae hi wedi bod yn hapus iawn ar fy ysbryd; dim pryder, dim gofal, ond gafael yn nwylaw fy Iesu.")

Alaw—"Breuddwyd y Bardd."

Gorweddai y bardd ar ei wely
  A'i gorff oedd wywedig gan loes;
Ei gof a ehedai'n hiraethus
  Ar hyd anwyl lwybrau ei oes;
Fe ai ei feddylfryd hyd feusydd ei febyd
  I foreu ei ddyddiau mor aiddgar a hardd—
  Yn nhristwch ei ysbryd adgofiai y bardd.

Fe welai ei hun yn Wisconsin
  Yn blentyn, yn fachgen, yn ddyn;
Yn mhlith ei obeithion a'i lyfrau
  A'i awen a'i gwynfyd fel gwin;
Fe gofiai ddyddorion y mwyn gynghaneddion,
  Oblegid a'i galon fe'u carai mor hardd;
  Hen fwyniaith ei dadau a hoffai y bardd

Fe gofiai y modd vr efrydiai—
  Y chwiliai hen Feibil ei fam,
Drwy feusydd hen wych athrawiaethau
  'R efengyl a deithiodd bob cam;
Fe wyddai yr arfaeth a ffyrdd cadwedigaeth
  A'r ddysg am yr Iawn, y fawr Aberth mor hardd,
  Y rhai'n oll ni thycient yn meddwl y bardd.

Pob dysg heddyw'n wyw a ddiffoddai
  A'r rhiniau a'r doniau bob un;
Wrth ddisgyn i ddyffryn du angeu
  Fe deimlai yn awr wrtho'i hun;
Y bardd lawenychodd oblegid fe welodd
  Drwy'r gwyll yn ymestyn y Dwylaw mor hardd;
  Y Dwylaw Tragwyddol gymellent y bardd!

Ac yna y dyffryn oleuodd,
  A gwelai y ddinas fan draw;
Diflanodd pob pryder a gofal,
  A'r glyn a anrheithiwyd o'i fraw;
Ac yna yn ddedwydd o ganol ei gystudd
  Yn hapus yr elai i'r gwynfyd mor hardd—
  Yn nghwmni yr Iesu yr elai y bardd!

# Y Pryddestau.

## Eiddo Jonathan.

Sef y Parch. W. R. Edwards (Glan Llafar,
Scranton, Pa.

Orphenol mawr! O! boed i'th ryfedd ddor
I esmwyth ymagoryd ger fy mron,
Fel gallwyf weled bywyd prydferth, glan,
Fy nghymrawd hoff!—a phortreadu'n llawn,
Ei ogoneddus rawd tra yn ein plith.
Anmharod yw fy awen at y gwaith,
Anfoddlawn yw i ganu galar gan—
I wisgo du am enw sydd mor wyn.
Gwell fyddai ganddi wneuthur arwr gerdd
I'r gwr gyfododd Duw i wneuthur gwaith—
Fawrygir eto gan yr oesau ddaw.
G. H. Humphrey! nid adyn brwnt a chas
Ac nid yr "angel perffaith chwaith oedd ef"—
Ond dyn dihoced, unplyg, cywir, cu,
A rodiai megys Enoch gyda Duw.
Dyn gerddai'n drwm wrth fyned trwy ein byd,
A dwyf-brydferthawg flodau'n tyfu sydd
Yn ol ei draed—blith swynion bryniau hedd.
Yn moreu 'i oes gwarcheidiawl engyl nen,
Fu'n gwylio'i gryd, gan daenu drosto'n gu
Eu hedyn claer—sibrydent uwch ei ben—
"O faban hardd! Tydi wyt dlws i Dduw."
Yn foreu-gynar ei ddynoliaeth wir,

Addurnir gyda cheinion dwyfol, teg;
A gobaith, yntau, gyda'i neithdar pur,
Sy'n ter eneinio yr ieuengaidd fab,
Gan enfysliwio nen ei einioes gu,
A phlanu ger ei lwybr "flodau'r dydd."
O brydferth fab! mae boreu'i ddydd yn wyn,
A'i lu cyfoedion sydd o'i gylch yn troi—
Fel iorwg gwyrdd am bren, yr ydoedd ef
Yn mwynder hardd ei urdd i'w golwg hwy,
Fel teg flodeuyn, o anfarwol ryw.
Ei fagu gadd yn nghol yr Ysgol Sul,
O'i bronau sugnodd ddidwyll laeth y Gair;
Penodau lu adroddwyd ganddo ef,
Ar ddechreu yr oedfaon—a thrwy hyn
Yn hyddysg daeth yn ymadroddion Duw.
Bu ef yn "fachgen da," yn union fel
Y cyngor gafodd gan ei fodryb gu.
Pan aeth i'r ysgol ddyddiol yn y wlad,
Ei fywyd ieuanc glan i'r golwg ddaeth,
A chloion llys edmygedd pawb cyn hir
Agorwyd ganddo ef; a'i athraw craff
Ganfyddai ynddo yr ysgolor gwych—
Er nad oedd eto wedi teithio'n mlaen
Ond milldir gynta'i oes. Ymledu wnaeth
Tlos wawr ei fywyd gwyn, gan addaw dydd
O ddefnyddioldeb mawr—yn llawn o waith.

Ar athrofeydd ei wlad gwynebodd ef,
I chwilio am y perlau oedd yn nghudd
Yn ieithoedd meirwon byd. Sychedig oedd
Ei enaid am wybodaeth; rhagddo'r aeth,
Gan ddringo'n eofn uchel drumiau dysg.

Meddyliau doethion ddadenhuddodd ef,
A'i feddwl ieuanc cryf a dreiddiodd trwy
Y cneuog nudd orweddai'n drwchus ar
Feddyliau'r oesau fu. Do, chwiliodd ef
Yn ngrym ei ysbryd miniog, gyda chwys
Gyfandir mawr athroniaeth yr "hen fyd,"
Gan roi ar lu o'i "esgyrn sychion" ef
Dlysineb bywyd. Ynddo ef fe gaed
Yn cydgyfarfod, yr efrydwr byw,
A'r cydwybodol weithiwr dewr a hyf;
Fel ieuanc fab yr oedd ei fywyd pur
Yn orphwysedig dan y ddwyfol wawr.

O'r athrofeydd, fel eryr cryf esgynodd,
Ac uchel fanau clod cyn hir gyraeddodd;
A'i lathraidd, ddyrchafedig, fyw feddyliau
Belydrent ddwyfol fri o'u haur-binaclau.
Y bardd i'r golwg ddaeth yn ddystaw, wylaidd,
A'i oslef ber oedd lawn o swyn nefolaidd.
Bu ei farddoniaeth megys ffrwd wynfaol—
Mynydd Parnassus gynt—yn odli'n nefol.
Ei awen oedd fel heinif foneddiges,
O drwsiad hardd, yn weddaidd a dirodres.
Ei feddwl oedd fel gardd, yn llawn o flodau,
A gwisg o dlysni roddai am ei eiriau.
Esgynodd ef i ganol nef barddoniaeth,
I dderbyn urdd gan ddwyfol ysbrydoliaeth.
Urddasol fardd! rho'es ddegau o bwysiau,
O ardd ei awen der i loni'n dyddiau.
Ei ddwyf-gyfoethog awdl—awdl "Cariad,"
Saif fel paradwys werdd o hyd i'n teimlad.
Ei thirf rosynau wasgar eu persawredd,

Drwy gymoedd gwae ein byd, er maint eu dryg-
edd.
Ei swynion nefol a ireiddia'n bywyd,
Gan lunio Gwynfa'n nyfnder gwyw ein hysbryd;
Rhyw Iorddonen yw, orlifa'i glanau,
A chrasdir profiad dry yn deg werddonau.
Fel bardd, ymgododd ef i'r clir uchelion,
I deithio enfys lwybrau yr angylion;
A theg rosynau gerddi Duw gaed ganddo,
A gwlith o groth y wawr yn eu sancteiddio.
Ei grebwyll a'i ddarfelydd creadigol,
Yn nghyd a choethder ei athrylith swynol—
Roddasant iddo sedd yn rhwydd ddigymen
Yn mhlith y cewri, yn aur-gerbyd awen.

Ar lwyfan yr Eisteddfod,—pwy nad yw
Yn cofio'i ymddangosiad hawddgar, byw?
A'i ymadroddion pwyllog, llawn o hedd,
A'r naws sancteiddiol oedd yn urdd i'w wedd?
Ei drem urddasol oedd yn hawlio parch,
A'r dorf a ro'i ufudd-dod llon i'w arch.
Ei bersonoliaeth hardd yn wastad oedd,
Yn galw am dawelwch, heb un floedd.
Fel beirniad rhoddwyd iddo'n ddinacad,
Aruchel sedd, yn ochr cewri'n gwlad;
Beirniadai'n deg a gonest, gyda phwyll,
Heb ffafrio neb—heb arfer clorian twyll.
Fe draethai 'i farn yn araf—eto'n glir,
A'i bwysleisiadau a ddyfnhaent y gwir.
Boneddwr oedd, heb gysgod coegni ffol
Yn gadael arogl esmwyth ar ei ol.
Nid mawredd enw'n unig feddai ef,
Ond mawredd gwir, o fonedd uchel nef.

Yn myd y meddwl safai'n Humphrey fad,
Fel derch dywysog ar ein heang wlad.
Ca ei erthyglau golygyddol glod
Gan feibion llen, 'mhen oesau eto i ddod;
A phrif feddylwyr y dyfodol pell,
A'i gwerthfawrogant ef yn llawer gwell.
Pwy nad yw'n cofio ei ergydion ef—
At "Dduwinyddiaeth Herbert?"—cododd lef
Gynhyrfodd Gymry'r wlad, a'i hadsain clir,
A glywir am flynyddoedd yn ein tir.
Yr enwog Hodge, y rhesymegwr hyf,
Ga'dd unwaith deimlo nerth ei fwa cryf—
Pan daflodd ato ei saeth-gwestiwn mawr,
Fel miniog ddur, o loew, ddwyfol wawr.
Y pen-cadfridog heb anurddo'i hun,
Ro'es deyrnged hyglyw i'w alluoedd cun.
Ingersoll hefyd pan yn rhingcian gwawd,
Dan faner rhyfyg ar ei annuw rawd—
Wynebodd ef, gan deimlo'i ysbryd byw,
Yn llosgi dros ogoniant "Gair ei Dduw."
Rho'es iddo her i'w gwrdd—ond draw y troes,
A'i natur mewn pangfeydd o dan ei loes.
Dirwestwr aiddgar trwy ei oes a fu,
Heb arno arliw twyll na chysgod brad.
I gysawd teg yr urdd 'roedd ef fel haul,
Yn euro'r holl amgylchoedd. Rho'es ei hun
Yn ddirgel ac ar g'oedd, yn aberth byw,
Ar allor pur wasanaeth. Gwrol fu
Ar faes y gad:—rhyw Nimrod oedd,
Flaenllymai ei wroldeb gyda Duw;
A'r gelyn a'i harswydai trwy y wlad,
A pharlwr ffyliaid grynai rhag ei ofn.

Yn y pwlpud, dyn oedd Humphrey, safai "ar ei
ben ei hun,"
Gan bregethu'n gryf ac iachus, yn ei ddullwedd
newydd gun.
Dynwarediaeth a ffieiddiai—ni chai ffugiant gan-
ddo ef,
Ddod i mewn i lwydo'r afon dardd dan orsedd
wen y nef.
Meddai ar wreiddiolder meddwl, annibynol oedd
ei fryd,
Ac nid benthyg oedd ei bregeth, ond ei eiddo'i
hun i gyd.
Hanesyddu wnai vn ddifyr, ac esbonio'n glir a
llawn,
Ymarferol oedd ei wersi—oll yn adeiladol iawn.
Ol astudiaeth fanwl ydoedd ar ei genadwri gref,
Rhoddai newydd wisg am dani—gwisg ac arni
dlysni'r nef.
Fe draddodai'n glir ddirodres, eto'n gynes ac yn
gu,
Heb y gan a'r hwyliog floeddio, oedd yn nydd-
iau'r Cymry fu.
Eto ar adegau byddai yn ymruthro megys cawr
Trwy gryf-rengau y gelynion, nes eu taflu'n llu
i lawr.
Clywid yn ei weinidogaeth ambell daran enfawr,
gref,
Fel canlyniad fflamgoch fellten, fyddai wedi
rhwygo'r nef.
Teimlwyd unwaith fud flaenarwydd o drychineb
diwedd byd—

Dor y farn fel pe yn agor, pawb yn sefyll wrthi'n
nghyd:
Braidd na thybid glywed gruddfan, enaid-ogof
byd a ddaw,
Ac na welid hil y gelyn yn ymwibio oddi draw;
Ond yn nghanol y rhyferthwy, ar yr ing a'r
ddirfawr loes,
Claer ogoniant a ddysgleiriodd, gan enfysu uwch
y groes.
Yntau gyda'i fys gyfeiriai tua'r "bryn ordeiniodd
Duw"—
Bryn maddeuant, bryn y cymod—bryn yr arian
flodau byw.

Ar eangfawr faes y gyfraith ymddysgleiriodd
dymor maith,
Ei alluoedd cryfion, treiddgar, roddent urddas ar
ei waith.
'Roedd ei ddeall clir a'i reswm dan reolaeth syn-
wyr cryf,
A'i afaelgar amgyffredion yn ei wneyd yn ddewr
a hyf.
Yn y "llysoedd barn" dadleuai, yn ei bwyllog
ddull ei hun,
A'i arwyddair clir, diwyro, oedd cyfiawnder i
bob dyn.
Yn ei gartref gyda'i deulu, byddai ar ei aelwyd
glyd,
Yn gwneyd gorsedd gras o honi, gan addoli
wrthi'n nghyd.
Llywodraethai mewn addfwynder, gyda myn-
wes eang, ddercl.,

Gwyliai ar eu symudiadau, a thynerwch angel serch.
Arogl bywyd oedd i'w deulu—gwnaeth ei oreu ar eu rhan,
Ac mae bendith Obededom eto'n aros ar y fan.

Ond ah! y Cymro dewr! fflam gref ei fywyd sydd
Yn prysur losgi allan—darfod mae ei ddydd.
Fel plyg y gangen o dan ddystaw eira gwyn,
Y plygai yntau yn ei buredd tua'r glyn;
Tra'i briod off fel rhyw angyles dyner, wen,
Yn ysgafn sychu'r chwys, a chynal pwys ei ben.
Ymadael wnaeth mewn ymorphwysiad llawn
Ar berffeithderau heirdd y Dwyfol Iawn.
Diangol ydyw ef, tu hwnt i'r glyn—
Mewn gwlad a phawb o'i mewn yn gwisgo gwyn.
Er rhoi fy mrawd mewn bedd,—anfarwol yw,
Mae yn ei fywyd pur o hyd yn byw.
Rhy lawn o ddwyfol riniau yw ei dda—
I allu marw—byw o hyd a wna;
A chalon gynes, bur, ei hoffus wlad,
Ar dant o aur a'i ceidw mewn coffhad.

# Eiddo Dros y Don.

Sef H. Isgael Lewis, Caernarfon, Cymru.

I.

'Rwy'n cofio'm cyfaill yn Nghymru wen,
A gwybren bywyd yn glir uwchben,
A gobaith ieuanc a'i bwyntil aur
Yn portreadu'i ddyfodol claer.
Ei rawd addysgawl oedd wen ddi 'staen,
A'i wych athrylith yn gyru'n mlaen;
Ymwthio wnai i gyfrinach ddrud
Prif ddysgedigion holl oesau'r byd;
Cartrefol oedd yn yr ieithoedd hen,
A theithiodd holl gyfandiroedd llen;
Clasuron beirdd a adwaenai i gyd,
A rhin eu dawn a wefreiddiai'i fryd;
A daeth ei hun yn awenydd mad,
I fesur cledd a phrif feirdd ei wlad.
Llifeiriai awdlau, cywyddau gwin,
O for ei enaid yn fywiol rin;
Fe garai'r 'Steddfod, ei iaith, ei wlad,
A llwydd ei genedl oedd ei fwynhad.
Er byw a marw ar dramor dir,
Fe bery 'i enw'n Nghymru'n hir;
Ochenaid Gwalia am fab ei bron
Yn crwydro sydd dros bellenig don!
Ein Humphreys anwyl! ei feddrod fydd
Yn gysegredig am lawer dydd.

II.

'Roedd fflam o serch at Iesu
Yn llosgi yn ei fron,
A holl adnoddau'i ddawn a roes
I borthi angerdd hon;
Addurnai yr areithfa
A gemau dysg a dawn,
Canolbwnc ei athrawiaeth gref
Oedd Aer y nef yn Iawn.

Ca'dd lawer oedfa rymus,
Wrth son am arfaeth Ior,
Goleuai 'i wedd gan lewyrch mir,
Na bu ar dir na mor;
Arlwyai wleddoedd ini,
Trysorau cyfoeth gras,
A ranai i drueiniaid
A'r nef arddelai'r gwas.

Ar lwyfan Cymdeithasfa
Yn Nghymru clywsom ef,
A brwydr pen Calfaria
Adseiniai yn ei lef;
Mae llawer blwydd er hyny,
Ond saint yr anial sydd
Yn cadw'r cofion hyglod
Rhag difrod anghof prudd.

Ond malais front, wenwynig,
Fu'n taenu rhwydi brad,
I geisio ei ddyfetha
Yn ngolwg gwyr ei wlad;

Ond gwyn dy fyd, fy ngyfaill!
  Cest feddrod merthyr gwir,
Tywyna y gwirionedd glan
  Uwchben dy lwch yn hir.

III.

Trodd ei feddwl at y gyfraith,
  Ac astudiai ddeddfau 'i wlad,
Daeth yn wych ddadleuydd medrus,
  Eofn dros gyfiawnder mad;
Nis gallasai dim ei brynu
  I weithredu'n groes i'w farn,
Gyda ei resymeg gadarn
  Gwnai ddadleuon twyll yn sarn.

Gwell oedd ganddo ef amddiffyn,
  Rhoddi 'i nerth o blaid y gwan,
Ac ni byddai ei eiriolaeth
  Byth yn methu yn un man;
Nid llythyren, ond yr ysbryd,
  Lanwai ei ddadleuon ef,
Fe esboniai groesau bywyd
  Yn ngoleuni deddfau'r nef.

Os y cwympodd y gwladgarwr,
  Rhin ei fywyd sy'n parhau;
Troi yn flodau ar ei lwybrau
  Mae yr had fu'n ddiwyd hau;
Gemau ei athrylith loew
  Lathrant byth fel ser y nen;
Rhoes ei awen lan oludog
  Fri ar iaith hen Gymru wen.

Cadwai draddodiadau'r tadau
  Yn ei galon gynes, gu,
Wrth edmygu Cymru heddyw,
  Carai son am Gymru Fu;
Carai awen gref Goronwy,
  Drachtiodd ysbrydoliaeth hon,
A chyffyrddodd danau cerub,
  Nes gwefreiddio llawer bron.

Humphreys enwog! awen Cymru
  Sy'n hiraethu ar ei ol,
Dweyd na welwn ni ei eilydd
  Nid yw yn ormodiaeth ffol;
Plentyn natur heb ddim rhodres,
  Mynwes gynes lawn o gan;
Nis gallasai ond yr angau
  Ddiffodd ei wladgarol dan.

IV.

Humphreys haelaf ei gymwynas!
  Cyntaf un i wneyd ei ran,
Yn mhob tywydd, os y byddai
  Eisiau codi brawd i'r lan;
Caredigrwydd megys afon
  Lifai odd ei fynwes fawr,
Pan y cwrddai blant trallodion
  Gallai atynt fyn'd i lawr.

Ei dynerwch oedd yr heulwen
  A oleuai 'i wyneb mwyn;
Angau gauodd law haelionus
  Fu yn lleddfu llawer cwyn;

Megys cyfaill mi wystlaswn
  Werth fy mywyd ar ei air,
Pe y chwiliwn wlad yn gyfan,
  Ei ffyddlonach byth ni chair.

Gwyr y nef pwy fyddai 'n noddi
  Rhai na welsent wenau ffawd,
'R oedd ei law 'run fath a'i galon,
  Yn agored fyth i'r tlawd;
Ah! pa angen sydd am blanu
  Ywen werdd na helyg prudd
Uwch ei feddrod cysegredig
  I drist wylo nos a dydd?

Ond gwahodder yma'r weddw,
  A'i hamddifaid yn ei llaw,
Gawsent ganwaith yn eu trallod
  Fodd i gadw angeu draw;
Gadewch idd eu dagrau siarad,
  O dan bwysau calon drom,
Wrth wel'd llydan borth ymwared
  Wedi cau, O! adwy siom.

"Llewyrch gwlad yn llwyr ddiffoddodd!
  A machludodd haul ei bri;
Nid oes neb wyr faint yspeiliwyd
  Gan y bedd o'n nefoedd ni;"
Dyna deyrnged serch i'w goffa,
  Demtiai gybydd droi yn hael,
Er mwyn enill fath warogaeth—
  Hoffai angel gwyn ei chael.

V.

Esgynodd uwch pob loes,
I wlad heb groes, heb gri,
Heb gwmwl marwol nos
Yn duo'i wybren hi,
Fy nghyfaill gwiw! mawr yw dy fraint,
Anfarwol swyn sy'n nghwmni'r saint.

Nis gall cenfigen ddu,
Na brad ei flino mwy,
Cadd yno newydd gan,
A chwmni glan diglwy,
A thelyn aur ein telyn ni
Felusa'r son am Galfari.

Mae heddyw wrth ei fodd,
Yn adrodd gwerth y gwaed,
Yn canmol dwyfol fraich
A'i daliodd ar ei draed,
Pan oedd y byd a'i chwerw siom
Yn clwyfo'n drist y galon drom.

Fy anwyl gyfaill cu!
Os dedwydd yw dy hynt,
Mae 'mron gan hiraeth dwys
Fel mor dan bwys y gwynt,
Tydi'n ddiangol uwch pob ton,
A finau, 'mrawd, yn drist fy mron.

Tydi yn gerub gwyn,
Uwchlaw y glyn a'i gur,
Yn dwyn o'r tanau tyn
Wledd o lawenydd pur,
A finau yn yr anial gwyw,
A dagrau 'mron yn eli 'mriw!

## Eiddo Bardwell.

Sef y Parch. D. P. Griffith (Efrog), Lansford, Pa.

Anwylaf gyfaill! y mae gwagder, gwagder,
Ar ol eich colli; mae telynau lawer
Yn ddystaw anobeithiol; y mae'r gan
Yn marw ar lan yr afon, ac mae'r tan
Proffwydol, losgai yn eich llygaid gynt,
Wedi myned allan o flaen rhuthr y gwynt
Sy'n rhewi glanau yr Iorddonen ddofn,
Ond aethoch chwi, yn gadarn a diofn
Drwy'r niwl a'r nos, ac fel eich bywyd cryf
Canasoch chwithau yn y 'storom hyf;
Fel Moses gynt yn dod i wyddfod Un,
Yn marw, a chanu ar ei fedd ei hun;
Fel hyn y daethoch chwithau yn ddifraw,
A thrwy y dyfnder, aethoch law yn llaw
Ag un sy'n gryfach na mynyddau'r nef,
A chawsoch gysgod ei gyfamod Ef.

Rhy gynar, gyfaill, aeth eich haul i lawr,
Yn nghanol llwyddiant a gogoniant mawr
Eich bywyd aml-ochrog; rhyfedd iawn
I'r nos eich dal mor fuan wedi'r nawn,
A'ch pwrpas heb ei orphen, a'ch gobeithion
Yn chwalu yn eich cystudd, yn falurion,
A lleisiau'n galw o'r mynyddau uchel,
A chwithau'n methu wrth eu gwadnau isel.

Trist iawn fu'r newydd o'ch symudiad cynar,
I'ch holl gydnabod; ni bu dyfnach galar
Ar ol un cymrawd. Pan y cyfarfyddem,
Y dagrau a adroddent am a deimlem,
Neu wasgiad llaw, frawdgarol, a dystawrwydd
Am fod ein hiaith yn pallu; mae mudanrwydd
Yn fwy o angel cydymdeimlad pur
I gyd-ymddwyn a chariad yn ei gur.
Na'r gawod drom, mae'r gwlith yn well i fwydo
Y blodyn gwan sy'n gorwedd wedi' glwyfo.
Ie trist fu'r newydd, aeth i'm bron fel cledd
Fod Griffith Henry Humphrey yn ei fedd!

Yn nhymor ei fachgendod, cofiwn ef
Ar wastadeddau y Gorllewin mawr,
Yn edrych i'r dyfodol gyda threm
Yr Iuddew at ei Ganaan; bu efe
Yn ddiwyd gyda'i wersi yn y nos
O fewn y cartref duwiol, fu o werth
Parhaol iddo drwy ei daith i gyd;
Ac fel bu'r tadau yn gwrteithio'r tir,
Gan droi yr anial yn gartrefi llwydd,
A'r corsydd yn ddinasoedd, yntau fu
Yn trwytho'i feddwl o gynauaf mawr,
Meddyliau y canrifoedd; daeth efe
Yn hyddysg yn y celfau, ac yn feistr
[illegible]wn llawer gwyddor, 'roedd ei feddwl clir
[illegible] galon fawr, mor fyw o'r yni cryfaf,
[illegible] mynu meistroli'r wers anhawddaf.

[illegible]di[illegible]iwyd ef a chorff cyhyrog, hardd,
[illegible] o'r coed sy'n tyfu draw yn ngeillt

Ei gartref foreu' oes,—yn dal, yn syth,
Yn estyn at yr haul; ei wyneb glan
Yn hir a gofiwn, gyda'r llygaid clir,
A'r farf dderwyddol, gyda'r pen oedd lawn
"O'r gyfraith a'r proffwydi," personoliaeth
Oedd gyflawn mewn cydbwysedd, a gwybodaeth,
A'r galon wresog yn rheoli'r oll,
Fel peiriant perffaith, heb un tant yn ngholl.

Adgofiwn aml i felus awr, ac ymgom,
A llawer darn barddonol, grymus, glywsom
Yn ei gymdeithas ddyddan; cofiwn hefyd
Am groesaw yn ei dy, ac am y gwynfyd
A deimlem yn y teulu. Yr oedd angel
Cariad yn gwarchae ar y cartref tawel,
Ac yntau fel offeiriad yn llywyddu,
Yn dechreu'i ddiwrnod gyda mawl a gweddi,
Calon y plant yn un a'u mam a'u tad,
Nid oedd hapusach cartref yn y wlad!

Fel Paul, ei benaf ymffrost oedd y groes,
Ac am ei gallu atdyniadol hi
I gasglu'r holl genedloedd at yr Hwn
Fu'n tori' galon arni i iachau
Yr heintiau mwyaf marwol; hyawdl iawn
Y safai gyda'r dorf, fel Pedr gynt,
A than y Pentecost ar ei dafod ef,
A grym duwioldeb yn ei bwnc a'i lais,
I blygu'r cyndyn ar ei liniau, a throi
Ei wyneb at ei gartref; yn foreu iawn
Y Beibl oedd ei lyfr, cwpanau llawn

Ei addewidion clir fu'n nerth i'w ddal
Mewn llawer adfyd, llawer adnod ddaeth
O law yr efengylwr, gyda mel
Trugaredd at ei wefus, pan yr oedd
Ei ysbryd ar ddiffygio; hwn a fu
Yn destyn ei fyfyrdod drwy'r blynyddau,
Ac nid oedd masnach, na'r prysuraf oriau,
Nad oedd yn rhoddi rhan o'i ddydd i chwilio
Y mor anhysbydd nad oes derfyn iddo.

A chofir hefyd am ei weinidogaeth
Yn y dinasoedd* mawrion; am ddarpariaeth
Ei feddwl llawn, toreithiog; mae llaweroedd
Yn diolch am y dydd byth-gofus, ydoedd
Yn ddydd eu troedigaeth, pan y traethai
Efengyl cariad i bob un a'i mynai,
'Roedd craff fanylder yn ei bregeth gref,
A gwerth ac addysg wrth ei wrando ef.

Llenyddiaeth! O! mor chwerw wyla hi,
Ar ol ei phlentyn, y mae'r dagrau'n lli'
Yn datgan swm ei serch, am un a'i foes
Wnai osod urddas arni drwy ei oes.
Mae'r delvn wedi'i rhwygo, ac yn crogi
O dan yr helyg, wedi llwyr ddystewi,
A dim ond murumr trist yr afon fawr
A glywir heibio Babylon yn awr,
Gan nad oes neb all ganu, pan mae ysbryd
Cynghanedd Duw yn marw yn ei fywyd.

---

*Pittsburg ac Efrog Newydd.

Ac yn ei fabwysiedig swydd y bu'n llwyddianus,
Ei allu mawr dadleuol, manwl, medrus,
A hawliodd iddo barch a sylw'r wlad,
A chynorthwyodd lawer, er boddhad,
O dlodion mewn cyfyngder; bu'r cyfreithiwr
Mewn llawer helynt poenus, yn heddychwr,
Cododd ei lais ar bynciau mawr ei ddydd,
Ei fywyd yn wasanaeth.
                                        Hir y bydd
Adgofion am ei ddyddiau golygyddol,
Am lawer erthygl fedrus ac amserol
Ar bynciau llosg y dydd; mewn unrhyw swydd
Roedd ef yn gyflawn, a'i holl waith yn llwydd.
A mwy na'r unrhyw swydd, 'roedd ef yn gawr
Yn ei ddynoliaeth, un yn ddynol fawr.

Eithr hirach cofir am y bardd awenol,
A'n swynodd a'i orchestion cyfareddol,
Yfodd yn hir ac aml yn Helicon,
O fewn ei awdlau, clywn guriadau'i fron
Yn eglur yn mhob brawddeg; yma eto
Y groes a'r "cariad dwyfol" roddes iddo
Ei destyn pwysig, gydag aer y ne'
I "fin" yr ardd yn "ysgafn" aeth efe,
Ac yno yn yr "awr fawr, fawr, a fu"
"Er's oesau'n aros" y daeth ef i'r du
Gysgodau trymion, fu yn cau y nef
O olwg y "Mab unig," clywodd lef
"Anfeidrol," o "ddyfnderoedd" enaid Iesu,
A chlywodd gri y bleiddiaid yn dynesu,
I rwygo'r Oen diniwed; clywodd draw
Swn y morthwylion ar y groes, a braw

Yn ysgwyd Salem, a'i mynwentydd hi,
A'r gwaed yn cochi creigiau Calfari.
Dyma y testyn a'i cynhyrfodd ef,
A roddes "heol" i'w athrylith gref.
Ac nid oes destyn fel y groes yn bod,
Na phwnc i feirdd yr oesau byth i ddod
Yn ail i'w "farw Ef," mae hwn yn ddigon
O destyn oesau'r nef, i'r beirdd-angelion!

Hon fydd y golofn saif yn hir, yn hir,
I'w gadw mewn coffhad o fewn y tir
Tra pery'r iaith yn fyw; bydd llawer un
Mewn myfyrdodau dystaw, wrtho'i hun
Yn caru troi yn barchus tua'r ardd,
I fyn'd drwy'r "awr" ryfeddol gyda'r bardd.
Yn araf, O fy nghalon! awn yn awr
I wel'd ein cyfaill yn ei gystudd mawr,
Mae trymder dwys yn pwyso ar ei ysbryd,
Mae llaw orchfygol angau ar ei fywyd,
A'r gwlith sydd ar ei dalcen yn dynodi
Fod hwyr y dydd yn agos, a goleuni
Y nef yn tori ar ei enaid pur,
Fod gwlad yn agos, heb na chroes na chur,
Y wlad sy'n agor ei boreuau iddo,
Ac y mae yntau'n ddystaw, yn clustfeinio
Rhyw gan mor llawn o heddwch a mwynhad,
Mor llawn o bob cynghanedd a boddhad,
Y gan a gollwyd yn y boreu pell,
Geir glywed eto yn y bywyd gwell.

Drwy gystudd hir, a gwendid, mewn amynedd
Y cadwodd ef ei ysbryd hyd y diwedd,

Yn pwyso ar y fraich, freninol, gref,
A'i daliodd yn ddiogel, nes i'r nef
A'i gwynfyd ei groesawu. Henffych wlad!
Ddaw cystudd byth na phoen i dy ein Tad.
Ceir gorphwys yno wedi'r hir flinderau,
Fydd yno neb yn ochain yn ei boenau ,
Na neb yn cofio dim am ddagrau, a bedd,
Mae'r corau nefol yn llawn hoen a hedd,
Mae'n gan a bywyd yno; mae llawenydd
Y gan a genir yno byth yn "newydd."

Mae'r cerbyd wrth y drws! a thaflai'm brawd
Ei fantell oddiwrtho, ac a aeth
I eistedd gyda'r angel, ac ar ffrwst
Yr edyn tanllyd, wele hwy yn troi
I heol y goleuni dorai draw
O'r bryniau pell, tragwyddol, lle mae Duw
A'i ddinas deg. Yn iach! yn iach! fy mrawd,
Os ydym ni yn oedi, yn dylawd
Yn crynu yn ein hofnau, cawn ryw ddydd,
Fel chwithau, o'n caethiwed ddod yn rhydd,
A chanu wrth fyn'd drwy y cenlli mawr,
Wrth ddod yn ol i'n cartref, gyda'r wawr.

# Eiddo Wyf Brudd.

**Sef John Grey (Eurfryn), New Castle, Pa.**

Hen delyn hiraeth—telyn "Alun" dyner
 Pan yn lleddf-ganu am ei "Heber" fawr,
Y delyn dynodd allan galon "Gomer"
 Wrth fedd ei "Ieuan" anwyl—bardd y wawr;
Os nad yw'r delyn hon mor llawn o danau,
Os nad yw gryfed, nac mor llawn o ddagrau,
Yr un ei natur, ie'r un ei nodau
 Wrth ganu bywyd Humphrey hardd ei wedd,
Tra golygfeydd ei oes yn gwasgar swynion
 Fel hwyr gysgodion haul wrth fyn'd i'w fedd.

O cadwed bysedd halog ffug a rhagrith
 Rhag cwrdd a'r tanau a difwyno'r gan,
Yr hwn fu fyw mor deilwng o athrylith
 Ei delyn-goffa hawlia ddwylo glan;
Troi cwr y llen at ei gymeriad mirain
A blyg ei wlad edmygol i wylofain;
Tywysog cenedl oedd, a medrai'i harwain
 Mewn llen a chrefydd o drofeydd y glyn,
Pe gellid casglu 'nghyd ei mewnol wasgfa
 Fe chwyddid cronfa gyda'r dagrau hyn.

Y'nghanol gwlad—yn eigion ei hunigedd
 Daeth cenadwri ato'i drwsio'i hun,

Derbyniodd weledigaeth a'i chyfaredd
  Fel agwedd breuddwyd, eto ar ddihun;
'Roedd heirdd orseddau dysg a chlod yn weigion,
A llwybrau eu dringfeydd y'mhell a geirwon,
Ac angen ysbrydoliaeth ar ei galon
  Cyn cyraedd eu safleoedd uchel hwy,
Ond gwisgodd sendyl goreu penderfyniad,
  Ac i'w ymrwymiad glynodd yn ddiglwy'.

Y'ngwaith amaethon draw ar dir Ixonia
  Daeth ato'i hunan y tro cynta' rioed;
Agorodd natur iddo'i thlos athrofa,
  Dan ei meithrinfa bu hyd ugain oed;
Dehonglai gudd athroniaeth hau a medi,
Darllenai lan farddoniaeth dail y perthi,
'Roedd haf a gauaf mewn amrywiol gerddi
  Yn disgyn drosto yn gawodydd byw,
Ystormydd yn athrawon! gyfoethoced
  Yr hwn sy'n clywed, ac yn deneu'i glyw!

Efrydydd ieuanc yn ei wanc anniwall
  Wrth fwrdd y llenor hwnw 'ngweithdy'r gof,
Yn derbyn cardod i gryfhau ei ddeall,
  Yn casglu'r briwsion i drysorfa'r cof;
A gwell na llo pasgedig yr afradlon
Oedd dysg gramadeg yn y mwg a'r gwreichion,
Ei grystyn caled oedd wrth fodd ei galon
  Er magu "mer ac esgyrn" ieithwr hardd;
Ei ddysglaer ddelfryd gyda gwawr y bore
  Oedd ban eisteddle y llawryfol fardd.

Mae cyfoeth perlau ar for-lenydd addysg,
  Rhaid gwylio cyfleusderau "casglu 'nghyd,"
Daw tonau amgylchiadau i wneyd terfysg
  Nes cuddio y trysorau lawer pryd;
Ond Humphrey a ddaeth allan yn ei amser,
Ei feddwl yn dyheu am y cyflawnder
Oedd yn guddiedig yn og'feydd y dyfnder;
  Dyfalach casglydd ni fu ar y lan,
Ac yn y pethau hyn bu ar ei elw
  Hyd hwyr ei farw o'r boreuddydd can.

O ysgol hwnt i ysgol yn dadblygu,
  Rhagolwg dreiddiol i ddyfodol gwyn;
Aderyn buddugoliaeth iddo'n canu
  Tra yntau'n llamu'n uwch o fryn i fryn;
Daeth yn raddedig mewn gwahanol gangau,
Daeth yn areithiwr fedrai enill brwydrau,
Ni fu boneddwr glanach ar y bryniau
  Yn cerdded gyda llwyddiant oes a gwlad,
Yn ddiymhongar, ond o'r myn'd trylwyraf
  Fel ar gynheuaf o gylch ty ei dad.

Esgynodd risiau'r pwlpud yn ei bryder,
  Daeth i gyhoeddi'r genadwri fawr,
Y nefoedd wedi'i drwytho a'r cymhwysder
  I'w chysegredig swydd rhwng nef a llawr;
'Roedd ganddo dafod grymus argyhoeddi,
A meddwl cyfan wedi'i gyfoethogi,
Ac ysbryd addfwyn wedi ei ddwyfoli,
  Hen wirioneddau'r Beibl ganddo'n 'stor;
Ac onid oedd ei allu cryf, difrif-ddwys
  Yn llanw'r eglwys hono'n Baltimore.

Pwy yfodd fwy o ffynon duwinyddiaeth?
  Pwy'n well ddeallodd ddoeth drefniadau'r nef?
Pwy safai ar ragfarnllyd dir ameuaeth
  Heb dderbyn o'i ergydion trymion ef?
O'i blaid ni chafodd Calfin gryfach arwr,
Yn nheithi'i ffydd y cerddai'n ymerawdwr,
Bu wrth y porth hyd oes yn wadal wyliwr
  Rhag dod o'r gelyn i anrheithio'i gred,
A phe y codai perygl ar y ffiniau
  Mellt ei resymau aent ar hyd a lled.

Sel dros wirionedd oedd yn fflamio'i deimlad,
  Yr oedd ei fyw a'i bregeth yn gytun,
Nid dweyd a gwneyd ar linell gwrthdarawiad,
  Nid honi'r Cristion ac anghofio'r dyn;
Esboniwr craffus clir, a'i ymadroddion
Yn dweyd ei ysbryd ac yn dweyd ei galon;
Yn dangos i drueiniaid eu peryglon
  Heb ofni soriant, nac heb ddysgwyl gwen,
Yn derbyn ac yn rhoi o'r goleuadau
  Ar ddyfnion bethau yr efengyl hen.

A gwybod "Heb ei fai sydd heb ei eni"
  Na feier ynte os camsangodd ef,
Ni ellir cael perffeithrwydd gwlad goleuni
  Yn llwch y llawr, tu yma i'r afon gref;
Ei wel'd yn bendrist ddisgyn o'r areithfa,
A gwrando'i brofiad yn y cyfwng yna
Atdynai ei ddirmygwyr am y cynta'
  I roddi ei cariad ar y briw;
Er troi ei gefn ar eglwys Efrog Newydd
  Ymdeithydd gyda chrefydd—gyda'i Dduw.

Ein bardd anwylaf, gyda chrebwyll feiddgar
  Yn chwareu'i edyn lawer uwch na ni,
Ac fel mae'r eryr hyf yn frenin adar
  Y cadwodd yntau mewn awenol fri;
Yr hwn a lliwiau prydferth caeth-fesurau
Gyflwynai olygfeydd y ban ororau
I'w hongian ar barwydydd ein meddyliau,
  A'n dwyn i gofio am y pur a'r pell;
Ha! nefoedd fai cael benthyg ei adenydd
  I ymchwil newydd, ac i obaith gwell.

O dyna afon loew, lan, gynhyrfiol
  Yn dirwyn heibio, rhodiwn ar ei glan,
Llif ddesgrifiadol yw o'r "Cariad Dwyfol,"
  Swyn ei barddoniaeth deimlwn y'mhob man;
Tyr atom o'r pellderau yn ei mawredd,
Ac i'r sychedig tona ei thrugaredd,
'Does terfyn ar ei thlysni na'i chyfaredd;
  Ond "ysgafn gerddwn" i unigrwydd gardd,
Ar lawr mae y Gwaredwr yn ei ddagrau,
  Gwrandawn ar ei ruddfanau gyda'r bardd.

Y beirniad hwnw gariai i'r Eisteddfod
  Ddiwyro glorian, a chywirdeb pwys,
Cyfiawnder i'r llythyren oedd ei hanfod,
  Yn teimlo'i waith a'i gyfrifoldeb dwys;
Pe wrth ei farn yn hongian colli bywyd
Ni fyddai rhaid cyfnewid byth ei ddedfryd;
Mewn siomedigaeth planai yn ein hysbryd
  Garedig gyngor, ac nid miniog frath;
Arosed yn y byd ei dyner anian,
  Ac wrth y llwyfan glyned eto'i fath.

Y llenor diwylliedig, o'i erthyglau
  Hyd heddyw gwreichion ei resymeg dasg,
Ni fydd dadfeilio ar y cof-golofnau
  Sy'n cadw ei anrhydedd yn y wasg;
Ni throchodd ei ysgrifell mewn dall-bleidiaeth,
Ni lygrodd ei ymenydd a mympwyaeth,
Ond collai waed ei galon dros weriniaeth.
  Safonol oedd ei ddysg ar bwnc y dydd,
Y'nghanol ei ogoniant aeth o'r adwy,
  Ac eisieu ei gynorthwy 'n fynych sydd

Na chollwn olwg arno'n swydd golygydd,
  Pa chwaeth gydweddai'n well a'r glan a'r tlws?
'Roedd ganddo lygad craffus y pell-dremydd
  I wel'd pob amcan curo wrth y drws;
Gwybodus oedd yn holl ddirgelion cynydd,
Cyfarwydd a gogwyddiad y darllenydd,
A glanwaith ddigon yn coginio'r bwydydd;
  Ac er nas gwyddom pam y trodd i ffwrdd,
Gwybyddwn dderbyn o'i fendithiol anian
  O'r llestri arian goreu ar ei fwrdd.

Er ymneillduo i gyfrinach cyfraith,
  Cyfathrach gadwodd gyda llen a chan,
Rhy bwysig llafur oes i'w wystlo ymaith,
  Ni chredai yn yr allor heb ei than;
Tywynai'i obaith yn ei ffurf dryloew
Y'nghanol yr anialwch dyrys hwnw,
Nid yw egwyddor yn anadlu marw—
  Perl gwerthfawr yw "duwioldeb yn ei rym,"
'Doedd ffafrau'r byd (er cymaint wasgwyd arno)
  At ddysgwyl ei santeiddio namyn dim.

Mor wyl, mor barod oedd i wneyd cymwynas,
  Pe yn yr Ysgol Sul uwch twr o blant,
Neu'n cyfarwyddo doethion prid cymdeithas—
  Nid oes yn nhelyn angel dlysach tant;
Bu'n gryf wrth roi ei nerth dan feichiau cyni,
Bu'n hardd wrth blygu gyda'r tlawd mewn gweddi,
Bu'n fawr wrth fod yn isel mewn daioni,
  O dyna'r esgynfeydd i sylw'r nef—
Byw i esmwytho rhan o boen y werin,
  'Roedd bywyd brenin yn ei fywyd ef.

Mae'n rhaid cael nos cyn gweled ser yn toni
  Ar draeth y nefoedd yn eu gloewder pur,
Ar hyd y nos—ar ol i'r byd ddystewi
  Caf sibrwd angel i anghofio'r cur;
Mae'n nos, a gwelaf ser ei weithrediadau
O'm blaen yn agor—yn goleuo'r llwybrau,
A chenadwri'n boddi ein gofidiau
  Wrth ddweyd ei oruchafiaeth ar y byd,
O croesaw, croesaw weledigaeth nefol,
  Paham wyf gwynol? Ac mor brudd fy mryd?

Mae telyn galar o fy llaw'n ymollwng,
  A thelyn arall yn rhoi newydd sain;
Ddihunodd rhywun ef yn ei gynhebrwng
  Fel mab y weddw hono'n ninas Nain?
I'r golwg gwthia yn ein holl adgofion,
Mae yn gwresogi'n serch a'n hymadroddion,
Yn cerdded hyd heolydd ein breuddwydion,
  Yn siarad caredigrwydd yn ein clyw,
Yn taflu ei olygon bywiog tanbaid
  Ar draws ein henaid; onid Humphrey yw?

